# Deddf Rhyddid Gwybodaeth 2000

# Dogfen ddiffinio i Lywodraeth Cymru

Mae'r canllawiau hyn yn rhoi enghreifftiau o'r mathau o wybodaeth y mae'r ICO yn disgwyl i Lywodraeth Cymru eu darparu er mwyn cyflawni’ch ymrwymiadau o dan y cynllun cyhoeddi enghreifftiol.

Mae'r ICO yn disgwyl ichi drefnu bod yr wybodaeth yn y ddogfen ddiffinio hon ar gael oni bai:

- nad yw’r wybodaeth gennych;
- bod yr wybodaeth wedi'i hesemptio o dan un o esemptiadau Deddf Rhyddid Gwybodaeth 2000 (Deddf 2000) neu un o eithriadau Rheoliadau Gwybodaeth Amgylcheddol 2004 (EIR), neu y gwaherddir ei rhyddhau o dan statud arall (ee Rheoliad Cyffredinol y DU ar Ddiogelu Data);
- bod yr wybodaeth ar gael yn rhwydd ac yn gyhoeddus oddi ar wefan allanol. Efallai bod yr wybodaeth honno wedi'i darparu gennych chi neu ar eich rhan. Rhaid ichi ddarparu dolen uniongyrchol i'r wybodaeth honno;
- bod yr wybodaeth wedi'i harchifo, yn hen neu fel arall yn anhygyrch; neu
- y byddai paratoi'r deunydd i'w ryddhau fel rhan o’r drefn yn anymarferol neu'n ddwys o ran adnoddau.

Os oes gwybodaeth yn cael ei dal gan awdurdod cyhoeddus arall, dylech roi manylion ynghylch ble i'w chael.

Nid yw'r canllawiau wedi’u bwriadu i roi rhestr gynhwysfawr o bopeth a ddylai gael ei gynnwys mewn cynllun cyhoeddi. Mae'r ymrwymiad cyfreithiol yn ymwneud â'r cynllun cyhoeddi enghreifftiol, a dylech geisio darparu cymaint o wybodaeth â phosibl fel rhan o’r drefn, gan gynnwys yr holl wybodaeth sy'n ofynnol yn ôl y statudau.

Dylid darparu'r wybodaeth hon hefyd ar gyfer unrhyw asiantaethau gweithredol neu gyrff eraill o fewn Llywodraeth Cymru. Mae cyfeiriadau at "adrannau" yn y canllawiau hyn yn cynnwys y cyrff hyn. Er enghraifft, mae'r ICO yn disgwyl i asiantaeth weithredol gyhoeddi gwybodaeth am ei bwrdd rheoli a'i chyfrifon yn yr un modd â Llywodraeth Cymru ei hun.

Llywodraeth Cymru sy’n dal yn gyfreithiol gyfrifol dros sicrhau bod yr wybodaeth hon ar gael yn unol â'r cynllun cyhoeddi, hyd yn oed os yw'r cyfrifoldeb ymarferol dros weithredu’r cynllun wedi’i ddirprwyo i'r corff arall.

**Cyhoeddi setiau data i gael eu hailddefnyddio**

Yn rhinwedd eich swydd fel awdurdod cyhoeddus, mae'n rhaid ichi gyhoeddi o dan eich cynllun cyhoeddi unrhyw set ddata sydd gennych ac y gofynnwyd amdani, ynghyd ag unrhyw fersiynau wedi'u diweddaru, oni bai eich bod yn fodlon nad yw'n briodol gwneud hynny. Cyn belled ag y bo'n rhesymol ymarferol, rhaid ichi ei chyhoeddi ar ffurf electronig sy’n gallu cael ei hailddefnyddio.

Os yw'r set ddata neu unrhyw ran ohoni yn waith hawlfraint perthnasol ac os chi yw'r unig berchennog, mae’n rhaid ichi drefnu ei bod ar gael i'w hailddefnyddio o dan delerau trwydded benodol. Nid yw setiau data y mae'r hawlfraint neu’r hawliau cronfa ddata ynddyn nhw yn perthyn i’r Goron yn weithiau hawlfraint perthnasol.

Mae Cod Ymarfer Adran 45 2018 yn argymell y dylai awdurdodau cyhoeddus drefnu bod setiau data ar gael i’w hailddefnyddio o dan y Drwydded Llywodraeth Agored.

Mae’r term “dataset” wedi’i ddiffinio yn adran 11(5) o Ddeddf 2000. Mae’r termau “relevant copyright work” a “specified licence” wedi’u diffinio yn adran 19(8) o Ddeddf 2000. Mae’r ICO wedi cyhoeddi canllawiau ar setiau data (adrannau 11, 19 a 45). Mae’r canllawiau hynny’n esbonio ystyr “not appropriate” a “capable of re-use.

**Cynllun cyhoeddi enghreifftiol**

Mae'r tabl isod yn nodi'r wybodaeth benodol y mae'r ICO yn disgwyl ichi ei chyhoeddi o dan bob un o'r saith dosbarth gwybodaeth a nodir yn y cynllun cyhoeddi enghreifftiol.

| |
|---|
| **Dosbarth 1 – Pwy ydyn ni a beth wnawn ni**<br><br>Gwybodaeth am y sefydliad, ei strwythurau, ei leoliadau a’i gysylltiadau |
| Dylai'r wybodaeth yn y dosbarth hwn fod yn wybodaeth gyfredol yn unig, oni nodir yn wahanol. |

- **Rolau a chyfrifoldebau**

Darparwch wybodaeth amlinellol a manwl am eich rolau a'ch cyfrifoldebau, ac am rolau a chyfrifoldebau pobl ar lefel uwch.

- **Strwythur y sefydliad**

Rhowch esboniad o'ch strwythurau mewnol. Cyfeiriwch at eich swyddogaethau a nodwch y berthynas rhwng gwahanol adrannau’r Gweinidogion yn Llywodraeth Cymru ag adrannau eraill, mewnol ac allanol, a sut mae'r strwythur yn cyd-berthyn i'r rolau a'r cyfrifoldebau.

- **Cyfarfodydd y Gweinidogion â sefydliadau allanol (gan gynnwys cyfarfodydd â pherchnogion, golygyddion ac uwch weithredwyr papurau newydd a chyfryngau eraill)**

- **Cyfarfodydd yr Ysgrifennydd Parhaol â sefydliadau allanol (gan gynnwys cyfarfodydd â pherchnogion, golygyddion ac uwch weithredwyr papurau newydd a chyfryngau eraill)**

- **Cyfarfodydd cynghorwyr arbennig â sefydliadau allanol (gan gynnwys cyfarfodydd â pherchnogion, golygyddion ac uwch weithredwyr papurau newydd a chyfryngau eraill)**

- **Gwybodaeth am ddeddfwriaeth sy'n berthnasol i swyddogaethau'r llywodraeth**

Esboniad o sail eich gweithgareddau yn y ddeddfwriaeth. Esboniad o ddeddfwriaeth a gyflwynir gennych chi i'r Senedd.

- **Rhestrau o'r sefydliadau rydych chi’n gyfrifol amdanyn nhw, y rhai rydych chi'n gweithio mewn partneriaeth â nhw a'r rhai rydych chi'n eu noddi, a gwybodaeth amdanyn nhw**

Gan y bydd y rhan fwyaf o'r cyrff hyn yn gyfrifol am eu materion eu hunain, mae'r ICO yn disgwyl i'r wybodaeth hon fod yn ddigon i nodi'r berthynas rhyngoch chi a'r cyrff hyn.

- **Gweinidogion, Dirprwy Weinidogion, y Cwnsler Cyffredinol, Prif Weithredwyr, aelodau'r bwrdd rheoli ac uwch weithredwyr**

Enwau, cyfrifoldebau a manylion bywgraffyddol Gweinidogion, uwch

weision sifil a'r rhai sy'n gwneud penderfyniadau strategol a gweithredol ynghylch darparu'ch gwasanaethau

- **Lleoliadau a manylion cysylltu Llywodraeth Cymru**

Rhowch eich cyfeiriadau post ac ebost. Os oes modd, rhowch enwau'r cysylltiadau gan gynnwys rhifau ffôn a chyfeiriadau ebost.

- **Adroddiadau ar y bwlch cyflog rhwng y rhyweddau**

Darllenwch ganllawiau'r Llywodraeth ar adroddiadau ar y bwlch cyflog rhwng y rhyweddau i weld pa wybodaeth y mae angen ichi ei chyhoeddi. Cyhoeddwch y data hwn yn flynyddol os yw nifer eich staff yn 250 neu fwy.

## Dosbarth 2 - Faint rydyn ni'n ei wario a sut

Gwybodaeth ariannol ynghylch yr incwm a'r gwariant a ragwelir a'r incwm a'r gwariant gwirioneddol, caffael, contractau ac archwiliadau ariannol

Trefnwch fod gwybodaeth ariannol ar gael am y flwyddyn ariannol bresennol a'r ddwy flaenorol o leiaf.

Os oes arian yn cael ei ddyrannu i ganolfannau cost penodol ac os yw'r wybodaeth hon yn helpu i egluro sut mae arian cyhoeddus yn cael ei wario, ystyriwch gyhoeddi hynny.

- **Datganiadau ariannol, cyllidebau ac adroddiadau ar amrywiannau**

Manylion gwariant yr adrannau dros £25,000 (misol).
Manylion contractau a thendrau'r llywodraeth sy'n werth dros £25,000
Manylion gwariant o fwy na £500 ar gardiau caffael y llywodraeth.

Gwybodaeth ariannol sy'n ddigon manwl i ganiatáu i'r cyhoedd weld ble mae arian yn cael ei wario, ble rydych chi yn bwriadu ei wario neu wedi bod yn bwriadu ei wario, a'r gwahaniaeth rhwng y ddau.

Cyhoeddwch wybodaeth ariannol o leiaf bob blwyddyn a, lle bo hynny'n ymarferol, darparwch adroddiadau ariannol bob hanner blwyddyn neu bob chwarter hefyd. Cynhwyswch gyllidebau refeniw a chyllidebau ar gyfer gwariant cyfalaf.

- **Rhaglen gyfalaf**

Dylid trefnu bod gwybodaeth ar gael am gynlluniau mawr ar gyfer gwariant cyfalaf gan gynnwys unrhyw gontractau menter cyllid preifat a chontractau partneriaeth cyhoeddus-preifat.

- **Adolygiadau gwariant**
- **Adroddiadau archwilwyr ariannol**
- **Lwfansau a threuliau uwch weision sifil ac aelodau'r bwrdd**

Manylion y lwfansau a'r treuliau y gellir eu hawlio neu eu hysgwyddo. Cynhwyswch gyfanswm y lwfansau a'r treuliau a delir i uwch staff unigol ac aelodau'r bwrdd rheoli drwy gyfeirio at gategorïau. Dylid llunio'r categorïau hyn yn unol â pholisïau, arferion a gweithdrefnau'r llywodraeth a hynny o dan benawdau fel teithio, cynhaliaeth a llety.

- **Gwariant y Gweinidogion**

Cyfanswm y lwfansau a'r treuliau a ysgwyddwyd gan y Gweinidogion neu a dalwyd iddyn nhw, drwy gyfeirio at gategorïau. Dylid llunio'r categorïau hyn yn unol â chanllawiau'r llywodraeth a hynny o dan benawdau fel teithio, cynhaliaeth a llety.

- **Cyflogau a strwythurau graddio**

Gallwch ddarparu hyn fel rhan o'ch strwythur sefydliadol. Cynhwyswch fanylion cyflogau'r staff uwch mewn bandiau o £5,000 o leiaf. Yn achos pob swydd arall, nodwch lefelau'r tâl yn ôl ystod y cyflog

- **Cynghorwyr arbennig**

Rhowch enwau cynghorwyr arbennig, y Gweinidog a'u penododd ac o leiaf y band cyflogau perthnasol.

- **Gweithdrefnau caffael**

Manylion y gweithdrefnau ar gyfer caffael nwyddau a gwasanaethau. Contractau sydd ar gael ar gyfer tendro cyhoeddus.

- **Rhestrau o gontractau a ddyfarnwyd a'u gwerth**

Cyhoeddwch fanylion y contractau hynny sy'n ddigon mawr i fod wedi mynd drwy dendr ffurfiol yn unig.

- **Datganiadau ariannol ar gyfer prosiectau a digwyddiadau**

Os oes prosiectau a all gael eu hadnabod, mae'r ICO yn disgwyl i'r cynllun cyhoeddi gynnwys o leiaf yr adroddiadau ariannol sy'n dangos y gwariant gwirioneddol o'i gymharu â chyllidebau gwreiddiol y prosiect. Mwyaf i gyd y bo'r prosiect, mwyaf i gyd o fanylion a ddylai fod ar gael. Yn yr un modd, pan roddir cyhoeddusrwydd i ddigwyddiadau a drefnir, trefnwch fod y gost ar gael drwy'r cynllun cyhoeddi.

- **Rheoliadau ariannol mewnol**
- **Perfformiad talu'n brydlon**

Os yw'n gymwys i chi, cyhoeddwch ddata'n flynyddol ar eich perfformiad talu'n brydlon, yn unol â Pholisi Talu Prydlon llywodraeth y Deyrnas Unedig.

## Dosbarth 3 - Beth yw'n blaenoriaethau a sut rydyn ni'n dod ymlaen

Strategaethau, cynlluniau, dangosyddion perfformiad, archwiliadau, arolygiadau ac adolygiadau

Trefnwch fod yr wybodaeth yn y dosbarth hwn ar gael ar gyfer y flwyddyn bresennol a'r tair blaenorol o leiaf.

Isod ceir rhestr o'r math o wybodaeth a ddylai fod ar gael gennych yn rhwydd i'w gyhoeddi. Fel arfer, dylid cynnwys unrhyw adroddiadau eraill neu wybodaeth arall wedi'i chofnodi sy'n dangos eich perfformiad arfaethedig neu wirioneddol.

- **Strategaethau data agored**
- **Cynlluniau strategol**
- **Cynllun busnes blynyddol**
- **Adroddiad blynyddol**
- **Adolygiadau mewnol ac allanol ar berfformiad**
- **Adroddiadau i'r Senedd**
- **Adroddiadau ar arolygiadau**
- **Asesiadau o'r effaith ar ddiogelu data (ar ffurf lawn neu grynodeb) neu unrhyw asesiad effaith arall (ee Asesiadau o'r Effaith ar Iechyd a Diogelwch, Asesiadau o'r Effaith ar Gydraddoldeb etc), fel y bo'n briodol ac yn berthnasol**
- **Safonau gwasanaeth**
- **Ystadegau a gynhyrchir yn unol â gofynion y llywodraeth**

- **Cytundebau gwasanaeth cyhoeddus**
- **Llesiant**

Cyhoeddwch eich amcanion llesiant, datganiad am eich amcanion llesiant ac adroddiad blynyddol ar y cynnydd a wnaed o ran cyflawni'r amcanion hynny, fel sy'n ofynnol o dan Ddeddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol (Cymru) 2015.

## Dosbarth 4 – Sut rydyn ni’n gwneud penderfyniadau

Prosesau penderfynu a chofnodi penderfyniadau

Trefnwch fod gwybodaeth yn y dosbarth hwn ar gael ar gyfer y flwyddyn bresennol a’r tair blaenorol o leiaf.

- **Cynigion a phenderfyniadau polisi mawr**

Trefnwch fod gwybodaeth ar gael i'r cyhoedd lle bo modd gwneud hynny heb niweidio cysylltiadau â llywodraethau eraill neu heb niweidio datblygiadau polisi'r llywodraeth.

- **Gwybodaeth gefndir ar gyfer cynigion a phenderfyniadau polisi mawr**

Cynhwyswch ffeithiau, a dadansoddiadau o ffeithiau, sy’n berthnasol ac yn bwysig o ran fframio cynigion a phenderfyniadau polisi mawr.

- **Ymgyngoriadau cyhoeddus**

Darparwch fanylion ymarferion ymgynghori a mynediad i'r papurau ymgynghori neu wybodaeth am ble i gael y papurau. Cynhwyswch ganlyniadau ymarferion ymgynghori.

- **Asesiadau effaith rheoleiddiol**
- **Cofnodion cyfarfodydd lefel uwch**

Trefnwch fod cofnodion y bwrdd rheoli a chofnodion cyfarfodydd tebyg lle gwneir penderfyniadau ynghylch darparu gwasanaethau ar gael. Peidiwch â chynnwys deunydd y bernir ei bod yn briodol ei esemptio rhag cael ei ddatgelu.

- **Adroddiadau a phapurau a ddarperir i'w hystyried mewn cyfarfodydd ar lefel uwch**

Gwybodaeth a gyflwynir i'r rhai mewn cyfarfodydd sy'n gwneud

penderfyniadau gweithredol. Peidiwch â chynnwys deunydd y bernir ei bod yn briodol ei esemptio rhag cael ei ddatgelu.

- **Canllawiau ar gyfathrebu mewnol, meini prawf a ddefnyddir ar gyfer gwneud penderfyniadau, cyfarwyddiadau, llawlyfrau a chanllawiau mewnol**

Os byddai mynediad at gyfarwyddiadau, llawlyfrau a chanllawiau mewnol ar ymdrin â busnes y llywodraeth yn helpu'r cyhoedd i ddeall sut mae penderfyniadau'n cael eu gwneud, dylai'r rhain fod ar gael yn rhwydd. Nid yw'r ICO yn disgwyl i wybodaeth gael ei datgelu mewn achosion lle gallai datgelu niweidio gweithrediadau'r llywodraeth.

## Dosbarth 5 - Ein polisïau a'n gweithdrefnau

Y protocolau, y polisïau a'r gweithdrefnau ysgrifenedig cyfredol ar gyfer cyflwyno gwasanaethau a gwireddu cyfrifoldebau

Gwybodaeth gyfredol yn unig a ddylai gael ei chynnwys yn y dosbarth hwn.

- **Polisïau a gweithdrefnau ar gynnal busnes y llywodraeth**
- **Polisïau a gweithdrefnau ar ddarparu'n gwasanaethau**

Cynhwyswch fanylion am sut rydych chi'n cydymffurfio â gofynion Deddf yr Iaith Gymraeg 1993 a/neu Fesur y Gymraeg (Cymru) 2011.

- **Polisïau a gweithdrefnau ar recriwtio a chyflogi staff**

Cynhwyswch godau ymarfer, memoranda cyd-ddealltwriaeth a gwybodaeth debyg. Bydd nifer o bolisïau, er enghraifft cydraddoldeb ac amrywiaeth, iechyd a diogelwch a darpariaeth ynglŷn â'r Gymraeg, yn ymwneud â darparu gwasanaethau a chyflogi staff. Os ydych yn hysbysebu swyddi gwag fel rhan o bolisïau recriwtio, trefnwch fod manylion y swyddi gwag presennol ar gael.

- **Gwasanaeth i gwsmeriaid**

Safonau ar gyfer darparu gwasanaethau i'ch cwsmeriaid, gan gynnwys y weithdrefn gwyno. Bydd gweithdrefnau cwyno yn cynnwys y gweithdrefnau sy'n ymdrin â cheisiadau am wybodaeth a gweithredu'r cynllun cyhoeddi.

- **Polisïau rheoli cofnodion a data personol**

Cynhwyswch wybodaeth am bolisïau diogelwch, cadw, dinistrio ac archifo cofnodion, a pholisïau diogelu data (gan gynnwys rhannu data a defnyddio CCTV).

- **Cynlluniau ffeiliau (lefel uchel, ar gyfer systemau rheoli cofnodion cyfredol)**

- **Cyfundrefnau a pholisïau codi tâl**

Darparwch fanylion unrhyw gyfundrefnau statudol ar gyfer codi tâl. Dylai polisïau codi tâl gynnwys taliadau a godir am wybodaeth rydych chi’n ei chyhoeddi fel rhan o’r drefn. Dylent nodi'n glir pa gostau rydych chi’n eu hadennill, ar ba sail rydych chi’n gwneud hynny, a sut rydych chi’n eu cyfrifo.

Os ydych yn codi ffi am drwyddedu ailddefnyddio setiau data, nodwch yn eich arweiniad i wybodaeth sut rydych chi’n cyfrifo hyn ac a ydych chi’n codi'r tâl o dan y Rheoliadau Ffioedd Ailddefnyddio ynteu o dan ddeddfwriaeth arall. Chewch chi ddim codi ffi ailddefnyddio os ydych yn trefnu bod y setiau data ar gael i'w hailddefnyddio o dan y Drwydded Llywodraeth Agored.

## Dosbarth 6 – Rhestrau a chofrestrau

Gwybodaeth a geir mewn rhestrau a chofrestrau sy’n cael eu cadw ar hyn o bryd yn unig.

- **Cofrestrau cyhoeddus a chofrestrau a gedwir fel cofnodion cyhoeddus**

Os yw'n ofynnol ichi gadw unrhyw gofrestr a threfnu bod yr wybodaeth ynddi ar gael i'r cyhoedd ei harchwilio, bydd y darpariaethau presennol ynglŷn â mynediad fel arfer yn ddigonol. Ond, rhowch gyhoeddusrwydd i ba gofrestrau cyhoeddus sydd gennych, a sut rydych chi’n trefnu bod yr wybodaeth ynddyn nhw ar gael i'r cyhoedd. Pan fo cofrestrau'n cynnwys gwybodaeth bersonol, rhaid ichi sicrhau eich bod yn ystyried yr egwyddorion diogelu data.

- **Cofrestrau asedau a chofrestr asedau gwybodaeth**

Nid yw'r ICO yn disgwyl ichi gyhoeddi'r holl fanylion o’r holl gofrestrau asedau. Er hynny, mae'r ICO yn disgwyl ichi ddarparu lleoliad tir cyhoeddus ac asedau sy’n adeiladau a gwybodaeth am y nodweddion allweddol sydd fel arfer yn cael ei chofnodi ar gofrestr asedau ynghyd â rhywfaint o wybodaeth arall o gofrestrau asedau

cyfalaf. Os ydych chi wedi paratoi cofrestr asedau gwybodaeth at ddibenion Rheoliadau Ailddefnyddio Gwybodaeth y Sector Cyhoeddus 2015, dylech gyhoeddi ei chynnwys.

- **CCTV**

Manylion lleoliadau unrhyw gamerâu gwyliadwriaeth CCTV agored sy'n cael eu gweithredu gennych chi neu ar eich rhan. Chi ddylai benderfynu ar lefel y manylion sy'n briodol. Gellid gwneud hyn fesul adeilad neu yn ôl lleoliadau daearyddol mwy cyffredinol e.e. codau post neu godau post rhannol, gan ddibynnu ar y materion diogelwch a godir.

- **Cofnodion datgeliadau**

Os ydych yn cynhyrchu cofnod datgeliadau sy'n nodi'r wybodaeth a ddarperir mewn ymateb i geisiadau rhyddid gwybodaeth neu geisiadau'r EIR, trefnwch ei fod ar gael yn rhwydd. Argymhellir cadw cofnodion datgeliadau fel arfer da.

- **Cofrestr rhoddion**

Y Gweinidogion – manylion rhoddion dros £320 a roddir neu a dderbynnir a chan ba sefydliad; teithio (gan gynnwys dros y môr, yn fanwl onid yw'n briodol barnu ei fod yn deithio nad yw'n arferol).

Os yw'n berthnasol, uwch weision sifil a chynghorwyr arbennig – manylion rhoddion a roddir neu a dderbynnir; lletygarwch a chan ba sefydliad; teithio (gan gynnwys dros y môr, yn fanwl onid yw'n briodol barnu ei fod yn deithio nad yw'n arferol).

- **Unrhyw gofrestr o fuddiannau a gedwir gan y llywodraeth**
- **Rhestrau eraill sy'n ofynnol o dan y gyfraith**

## Dosbarth 7 - Y gwasanaethau rydyn ni'n eu cynnig

Gwybodaeth am y gwasanaethau rydyn ni'n eu darparu ar hyn o bryd, gan gynnwys taflenni, canllawiau a newyddlenni

Yn gyffredinol, mae hwn yn estyniad ar ran o'r dosbarth cyntaf o wybodaeth. Er bod y dosbarth cyntaf yn darparu gwybodaeth am rolau a chyfrifoldebau Llywodraeth Cymru a'i Gweinidogion, mae'r dosbarth hwn yn cynnwys manylion am y gwasanaethau a ddarperir

gennych o ganlyniad i’r rheiny, yn rhyngwladol, yn genedlaethol ac yn lleol. Bydd o fudd i'r cyhoedd gael mynediad parod, er enghraifft, at bopeth o wybodaeth am y gwasanaethau a ddarperir yn fewnol o fewn Llywodraeth Cymru i'r wybodaeth sydd ar gael yn rhwydd wrth gownter cyhoeddus. Y man cychwyn fel arfer fyddai rhestr neu restrau o wasanaethau rydych chi’n gyfrifol amdanyn nhw, yn gysylltiedig â manylion y gwasanaethau hyn.

- **Cyfrifoldebau rheoleiddio**
- **Gwasanaethau i awdurdodau cyhoeddus**
- **Gwasanaethau i ddiwydiant**
- **Gwasanaethau i sefydliadau eraill**
- **Gwasanaethau i aelodau'r cyhoedd**
- **Gwasanaethau y mae gan y llywodraeth hawl i adennill ffi ar eu cyfer ynghyd â'r ffioedd hynny**
- **Cylchlythyrau'r llywodraeth**
- **Taflenni, llyfrynnau a newyddlenni**
- **Cyngor a chanllawiau**
- **Hysbysiadau i'r cyfryngau**